# Ieitheg a Geirdarddiad yn Iaith Sir y Fflint-

# *Hefyd yn taflu goleuni ar hanes y Gymraeg a ddefnyddid ym mhentref bach y sir sef Coed-llai*




*Traethawd Estynedig*

*Stephen Owen Rule*

Cynnwys


| | |
|---|---|
| Crynodeb a diolchiadau | 1 |
| Rhagymadrodd | 3 |
| Daearyddiaeth Sir y Fflint | 6 |
| Rhannu'r Sir | 8 |
| '*Fflinneg*' - Y Term a'i Ystyr | 9 |
| Yr Acen | 10 |
| Effeithiau Ieithyddol | 11 |
| Y Saesneg | 11 |
| Ardal Rhosllannerchrugog | 13 |
| Ardal Caernarfon | 15 |
| Gramadeg: | 17 |
| Amser Gorffennol Arferol | 17 |
| Yr Arddodiad- *â/ag, na/nag* | 19 |
| Yr Arddodiad- *gan* | 20 |
| Cywasgiad a Thrawsosod | 21 |
| Caledi Seiniau | 22 |
| Seiniau Arbennig: | 25 |
| Y Sain '*e*' | 25 |
| Y Sain '*o*' | 28 |
| Y Sain '*-si-*', '*-is-*' | 28 |
| Geiriau ac Ymadroddion Arbennig | 29 |
| Geiriau Gogleddol yn Sir y Fflint | 36 |
| Coed-llai | 37 |
| Diweddglo | 41 |

Crynodeb

"*O holl siroedd Cymru, nid oes yr un fwy diddorol na Sir y Fflint*" -T. Gwynn Jones[1]....

Pwrpas y gwaith hwn ydyw taflu goleuni ar yr iaith a siaredid yn Sir y Fflint tua hanner ganrif yn ôl, ac yn bell yn ôl o hynny. Mewn gwirionedd, mae'r tafodiaith hwn yn dal i gael ei siarad, ond yn unig ymhlith y genhedlaeth hŷn. Mae plant y sir, yn ôl beth 'rwyf wedi clywed, yn tueddi i droi at iaith fwyaf gogleddol na '*Fflinnaidd*', sydd braidd yn anffodus.

Wrthi'n cynnwys geiriau ac ymadroddion arbennig, yn ogystal â seiniau ac acenion sy'n perthyn i'r hen sir, mae'r traethawd hwn yn esbonio'r fath o Gymraeg a gaiff ei siarad dros hanner cant o flynyddoedd yn ôl gan bobl a oedd yn falch dros ben o'u hen draddodiadau, a'u hen iaith.

Diolchiadau

Hoffwn estyn diolch i'r bobl a wnaeth siarad â mi am wahanol bethau am yr hen sir. Dysgais lawer am iaith y sir, yn ogystal â diwylliannau a thraddodiadau hefyd. Yma gyfeiriaf at y rai a wnaeth roi cymorth i mi wrth ymwneud â'r gwaith hwn.

Diolch i bennaeth fy hen ysgol, Mr. Douglas Jones, a'm helpodd ddod o hyd i bobl Gymraeg eu hiaith yn Sir y Fflint a'm cymryd i'w gweld. Diolch i'r hanesydd Ken Lloyd Gruffydd a'm helpodd i ddadansoddi llawer o enwau'r sir, ac esbonio i mi ddaearyddiaeth ieithyddol y sir. Diolch i Ieuan ap Siôn am ddisgrifio hen draddodiadau'r sir, yn ogystal â hen ganeuon Sir y Fflint (sy'n cynnwys hen

[1] Bardd enwog o Sir Ddinbych

eiriau'r dafodiaith). 'Roedd yn braf iawn cwrdd â thrigolyn y sir sy'n dal i ddefnyddio'i dafodiaith bersonol ei hun yn falch iawn. Diolch hefyd i Mrs. Mary Roberts (=Mary Plas ym Mhowys) (a'i mab) am ganu'r hen ganeuon i mi, a rhoi i mi wybodaeth am hen dermau a wnaeth hyhi a'i chyfeillion eu casglu. Ac yn olaf i Dr. Ian Hughes, a gafodd hwyl, gobeithiaf, wrthi'n trafod yr hen iaith y gwnaeth ei deulu ei defnyddio!

Mae'n rhaid estyn diolchiadau hefyd i'r llwyth o gyfeillion sydd gennyf a siaradodd â mi am eu hiaith hwy a'u profiadau gyda thafodieitheg sy'n perthyn iddynt yn bersonol. Ac i'r bobl eraill nad wyf wedi sôn amdanynt yma, yn syml iawn, diolch am siarad â mi.

Ar ochr personol, mae wedi bod yn braf iawn dysgu am yr iaith a siaradodd fy nhaid a'i deulu a ddaethant o Goed-llai, yn enwedig gan fe'i collais cyn i mi ddysgu'r Gymraeg, a chyn i mi ofyn iddo am ei hen draddodiadau a'i iaith ef. Wrth wybod hynny, 'rwyf yn lwcus iawn mewn ffordd fy mod wedi cymryd y cyfle 'nawr i siarad ac i ddysgu am hen ieitheg a thraddodiadau fy sir, wrth wybod efallai na fyddai hyn yn bosibl pe byddwn wedi edrych ar hyn mewn hanner ganrif, dywedwn. Yn achos hyn, diolchaf myfi fy hun am gael diddordeb mor fawr, ac mor gynnar ag y'i des o hyd ato!

Rhagymadrodd

Hen Sir ar y ffin gyda Lloegr ydyw Sir y Fflint, neu i roi'i henw 'gywir,' yn ôl Daniel Owen yn ei hesbonio, *Sir Fflint*. Lleolir ar y llun (mewn lliw gwyrdd golau) ydyw Sir y Fflint a renni ffiniau gyda Sir Ddinbych a chydag Wrecsam. O ran hanes cyflym, crëwyd yr hen sir gan Edward I (Brenin Lloegr) ym 1284 o dan Statud Rhuddlan. Wedyn, ail ddiffiniwyd y lle ym 1536 fel rhan o Ddeddf Uno'r un flwyddyn.



O ran siaradwyr y Gymraeg yn y sir, mae gobaith i wybod er mai ar y ffin ydym, mae mwy o siaradwyr nag efallai y byddwch yn ei ddisgwyl. Yn ôl cyfrifiad 2001, 'roedd 14.1% o boblogaeth Sir y Fflint yn medru'r Gymraeg. Yn 2006, gwelodd y sir godiad o ran nifer o siaradwyr y Gymraeg i 14.4%[2]. Yn ôl hyn, mae'n hawdd gweld bod yr iaith yn bendant yn dal i fodoli yn y sir, gyda rhan fwyaf ei siaradwyr yn fodlon iawn i'w defnyddio bob dydd.

Hoffwn edrych yn dipyn ar sefyllfa yr iaith Gymraeg tua'r cyfnod pan oedd yn eithaf gryf, a phan oedd iaith Sir y Fflint yn cael ei siarad fel y safon. Credaf fod popeth sydd angen ei ddweud yn cael ei ddweud yn y llyfr "*Flintshire*" gan J. M. Edwards;

*"In the Census Table of 1911, out of 75,931 persons from three years of age upwards, 5,722* [**7.6%**] *were returned as speaking Welsh only, 31,568* [**41.6%**] *as speaking Welsh and English, and 38,544* [**50.8%**] *as speaking English only. Around Saltney, Hawarden* [Penarlâg]*, Buckley* [Bwcle]*, and Hope* [Yr Hôb]*, and along the railway track from Sandycroft to Flint* [Y Fflint]*, the great bulk of the*

[2] Welsh Language Scheme / Cynllun Iaith Gymraeg (Cyngor Sir y Fflint)

*population speak English only. Along the coast from Bagillt to* [Y] *Rhyl, at Mostyn, Ffynnon Groew* [Y Ffynnon-groyw]*, Gwespyr* [Gwesbyr]*, Gronant, Gwaenysgor* [Gwaunysgor]*, Meliden* [Gallt Melyd]*, Newmarket* [Trelawnyd]*, and Diserth; around Rhuddlan, Rhuallt, and Bodfari; and in more inland towns and villages of the county, the bulk of the population speak both Welsh and English.* ***The Welsh spoken in Flintshire is not unlike the Welsh one hears in the Dee valley, though it has a few peculiarities of construction****. English is spoken now in Maelor Saesneg but the Welsh place-names of fields and streets remind us of a time when Welsh was the language of this district."*

Cafodd y llyfr a roddais y dyfyniad ganddo uchod ei ysgrifennu ym 1914[3], ac mae'n hawdd gweld o'r dyfyniad hwnnw 'roedd pobl yn gyfarwydd a'r iaith a oedd yn unigryw i Sir y Fflint yn y cyfnod dan sylw hefyd; gweler y llinell mewn lawysgrifen drwm.

Ond er bod Sir y Fflint yn sir Saesneg ei hiaith gan fwyaf heddiw, yn y sir hon oedd cartref Daniel Owen (fel y nodais uchod), awdur sy'n cael ei ddisgrifio'n aml fel ateb Cymru i Charles Dickens. Yn ogystal, mae ei nofelau yn dal i fod mor boblogaidd yng Nghymru (a hyd yn oed dros y byd mewn cyfieithiadau) heddiw ag yr oeddynt pan fu farw Owen dros gan mlynedd yn ôl.

Mae'r iaith Gymraeg yn Sir Fflint wedi cael ei dylanwadu gan, fel yr edrychwn i ar y peth, dair iaith neu dafodiaith eraill. O'r dwyrain - iaith Sir Gaernarfon, o'r gorllewin - yr iaith Saesneg, ac o'r dde - iaith Rhosllannerchrugog. O'm rhan personol, ac o ran beth 'rwyf wedi clywed, mae hyd yn oed dwy dafodiaith hyd yn oed yn y sir. Esboniaf hyn hefyd yn y traethawd hwn.

Trwy'r gwaith hwn, edrychaf ar wahanol bethau sy'n arbennig i Sir y Fflint o ran ieitheg, yn cynnwys gramadegau, geirfâu, ymadroddion ac ati. Yn ogystal, tynnaf sylw at hanes fy mhentref, sef Coed-llai, trwy lygaid yr iaith Gymraeg. A dweud y gwir, teimlaf yn dipyn fel Edward Lhuyd, a aeth dros Gymru yn holi am eiriau ac ymadroddion a oedd yn arbennig i wahanol lefydd.... A phwy a allai gwyno â theimlo fel hynny!?

[3] Edwards, J. M. '*Flintshire'* td. 65

*D.S. Wrth esbonio ynganiad seiniau'r Gymraeg (neu hyd yn oed seiniau ieithyddol eraill), 'rwyf yn defnyddio Gwyddor Seinegol Ryngwladol i'r Gymraeg*[4]*.*

[4] Erthygl ***Wicipedia*** ar y Wyddor Seinegol Ryngwladol i'r Gymraeg

<u>Daearyddiaeth Sir y Fflint</u>

Nid ydyw'n werth i mi roi ond lun o'r sir o fewn Cymru, heb gynnwys un sy'n dangos trefi a phentrefi'r sir. Mae'n hollol debyg nad ydyw pawb a fyddant yn darllen y gwaith hwn yn hollol gyfarwydd â phob pentref Sir y Fflint beth bynnag. Hoffwn, yma, estyn fy niolchiadau i Ken Lloyd Gruffudd am roi lwyth o fapiau i mi, yn ogystal â phentwr o'i waith ei hun am ystyr rhai enwau'r hen sir. Cynhwysaf lawer yma.




⏶ Edwards, J. M. MA, '*Flintshire*' - td 200-1

Dengys y map uchod y Maelor Saesneg ar wahân i weddill y sir, fel 'roedd cyn 1974.




▲ Deunydd yr Arolwg Ordnans - Comisiwn Ffiniau Llywodraeth Leol i Gymru – 2009

Hefyd (uchod), dangosaf lle gwelwn 'ffiniau' o wahanol dafodieithoedd. Esboniaf wedyn

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Argoed | Argoed |
| 2. | Aston | Aston |
| 3. | Dwyrain Bagillt | Bagillt East |
| 4. | Gorllewin Bagillt | Bagillt West |
| 5. | Gogledd Ddwyrain Brychdyn | Broughton North East |
| 6. | De Brychdyn | Broughton South |
| 7. | Brynfordd | Brynford |
| 8. | Dwyrain Bistre Bwcle | Buckley Bistre East |
| 9. | Gorllewin Bistre Bwcle | Buckley Bistre West |
| 10. | Mynydd Bwcle | Buckley Mountain |
| 11. | Pentrobin Bwcle | Buckley Pentrobin |
| 12. | Caergwrle | Caergwrle |
| 13. | Caerwys | Caerwys |
| 14. | Cilcain | Cilcain |
| 15. | Canol Cei Conna | Connah's Quay Central |
| 16. | Cei Conna Golftyn | Connah's Quay Golftyn |
| 17. | De Cei Conna | Connah's Quay South |
| 18. | Cei Conna Gwepra | Connah's Quay Wepre |
| 19. | Ewlo | Ewloe |
| 20. | Ffynnongroyw | Ffynnongroyw |
| 21. | Castell y Fflint | Flint Castle |
| 22. | Coleshill Y Fflint | Flint Coleshill |
| 23. | Oakenholt Y Fflint | Flint Oakenholt |
| 24. | Trelawny Y Fflint | Flint Trelawny |
| 25. | Maesglas | Greenfield |
| 26. | Gronant | Gronant |
| 27. | Gwernaffield | Gwernaffield |
| 28. | Gwernymynydd | Gwernymynydd |
| 29. | Helygain | Halkyn |
| 30. | Penarlag | Hawarden |
| 31. | Higher Kinnerton | Higher Kinnerton |
| 32. | Canol Treffynnon | Holywell Central |
| 33. | Dwyrain Treffynnon | Holywell East |
| 34. | Gorllewin Treffynnon | Holywell West |
| 35. | Yr Hôb | Hope |
| 36. | Coed Llai | Leeswood |
| 37. | Llanfynydd | Llanfynydd |
| 38. | Mancot | Mancot |
| 39. | Broncoed Yr Wyddgrug | Mold Broncoed |
| 40. | Dwyrain Yr Wyddgrug | Mold East |
| 41. | De Yr Wyddgrug | Mold South |
| 42. | Gorllewin Yr Wyddgrug | Mold West |
| 43. | Mostyn | Mostyn |
| 44. | New Brighton | New Brighton |
| 45. | Llaneurgain | Northop |
| 46. | Northop Hall | Northop Hall |
| 47. | Penyffordd | Penyffordd |
| 48. | Queensferry | Queensferry |
| 49. | Saltney Cyffordd Yr Wyddgrug | Saltney Mold Junction |
| 50. | Saltney Stonebridge | Saltney Stonebridge |
| 51. | Sealand | Sealand |
| 52. | Dwyrain Shotton | Shotton East |
| 53. | Shotton Uchaf | Shotton Higher |
| 54. | Gorllewin Shotton | Shotton West |
| 55. | Trelawnyd & Gwaenysgor | Trelawnyd & Gwaenysgor |
| 56. | Treuddyn | Treuddyn |
| 57. | Chwitffordd | Whitford |

▲ Deunydd yr Arolwg Ordnans - Comisiwn Ffiniau Llywodraeth Leol i Gymru - 2009

Rhannu'r Sir

Wrth gwrs, mae "rhannu'r sir" yn golygu ei rhannu'n ieithyddol. Mae'n anodd meddwl y gallai ddigwydd mwy nag un dafodiaith mewn sir mor fach â Sir y Fflint, ond cyn i mi ddysgu am dafodieitheg yn y brifysgol, 'roedd yn anodd i mi ddeall fod mwy nag un (dafod)iaith hyd yn oed yng Nghymru. Mewn gwirionedd, hoffwn feddwl mai tafodiaith ogleddol a thafodiaith ddeheuol yn Sir y Fflint. Dangosaf beth feddyliaf yn y llun uchod (pennod Daearyddiaeth Sir y Fflint, ail lun).

Gweler enwau llefydd y sir hefyd er mwyn cael syniad o le y gallwch ddod o hyd i enwau a oeddent yn wreiddiol yn Gymraeg. Sylweddoler y tueddiad i weld enwau Seisnig yn agosach at y ffin gyda Lloegr.

Yng ngogledd y sir, tueddir i glywed y sain '*a*.' Wrth luosogi, neu ond wrth ddweud geiriau sydd gan sain '*e*' yn ei sillafau terfynol. Yn ne'r sir, try hyn ar ei ben.

| | | |
|---|---|---|
| "pitha[5]" | /piθa/ | = pethau |
| "geiria[5]" | /gəɨria/ | = geiriau |
| "dichra[5]" | /dixra/ | = dechrau |

[5] Ceir y sain '-*e*' ar ddiwedd y geiriau hefyd!

‘*Fflinneg*’ – Y Term a’i Ystyr!

‘Roeddwn yn disgwyl gweld na fyddai fy nghywirwr sillafu *Microsoft Word* yn hoff iawn o’r gair hwn gan, mewn hollol gwirionedd, nad ydyw’n gair go iawn. Bathiad ydyw o’m rhan fy hun i olygu’r math o’r iaith Gymraeg a siaredir yn Sir y Fflint. Ni fyddaf yn mynd i ddefnyddio’r term yn y traethawd hwn, ond ‘roeddwn am ei ddefnyddio yma er mwyn ceisio creu gair sy’n hawsach ei dweud nag ‘*Iaith Sir y Fflint*.’ Os gall Gwent ei wneud wrth siarad ‘*Gwenhwyseg*’, pam na allem ni ei wneud?

O ran geirdarddiad y term, cefais hwyl dros ben. Cyn i mi ychwanegu’r terfyniad ‘*-eg*’, trodd yr ‘*-nt*’ terfynol a gaiff yn ‘Fflint’ yn ‘*-nn-*’[6], fel y’i gwelwn yn *llwyddia**nt*** > *llwyddia**nn**us*. Wedyn, ychwanegais y terfyniad ‘*-eg*’ sy’n dynodi, yn y dull hwn, iaith. ☺

[6] Gwnes yr un peth wrth fathu term newydd i ‘*Old Devonian*’ (iaith a siaredid, mae’n debyg, yn Nyfnaint tua’r wythfed ganrif) i Joseph Biddulph, sef ‘*Hen Ddyfnei**nn**eg*’

## Yr Acen

Y ffenomenon gyntaf a wnaeth ddal fy meddwl oedd y ffaith nad oedd pobl Sir y Fflint yn hoff o drilio'r sain <r> /r/. Nodwedd yr ieithoedd Celtaidd ydyw trilio'r sain <r>, yn enwedig y rhai Frythoneg. Tuedda, yn Sir y Fflint, i'r sain gael llais hefyd sy'n debycach at yr ynganiad Saesneg, yn lle'r ynganiad Cymraeg sy'n ddi-lais. Ceir y fath hon o ffenomenon mewn gwirionedd dros y sir i gyd, lle bynnag y ewch. Hyd y gwn i, nid oes sir arall yng Nghymru sy'n gwneud hyn.

Sylweddolais hefyd fod rhai o seiniau eraill yn newid yn iaith Sir y Fflint. Yn ogystal â'r cyfnewid sy'n digwydd yn iaith yr hen sir rhwng '*a*' ac '*e*' (esboniaf hyn wedyn), mewn rhai achosion gellir clywed y sain <y> /ə/ wrthi'n troi'n /ʊ/. Clywir hyn yn amlwg iawn yn y gair '*bychan*' sy'n ymddangos fel y caiff ei ynganu fel '*bwchan*'. Credaf mai dylanwad yr iaith a siaredir ym Mhowys ydyw hyn. Efallai mae'n werth tynnu sylw at y gair '*fuan*' yma lle ceir yr un sain /ʊ/ arbennig. Mae'n bwysig nodi hefyd y daw'r geiriau '*buan*' a '*bychan*' o'r un gwraidd.

Clywais yn aml wrth siarad â phawb a gefais gyfle i gwrdd â hwy nad ydynt yn dweud y sain <dd> /δ/ o gwbl. Clywir "***ffor' ene***" am "*ffordd yna*" yn wastad yn y sir. Nodwedd sy'n unigryw i Sir y Fflint, credaf, er bod rhai tafodieithoedd yn gwneud yr un peth wrth ddweud rhai geiriau.

I orffen am acen Sir y Fflint, hoffwn dynnu sylw at y sain <ô> mewn Cymraeg safonol. Mae'r WSR yn disgrifio'r sain hon yn /:o/. Peth pwysig i'w nodi am dafodiaith Sir y Fflint yn bendant ydyw'r sain sydd a geir pan fyddai rhywun o'r sir yn dweud y sain hon. Yn anffodus, nid oes sain gyfatebol yn y Gymraeg heddiw, ond meddyliwch chi am y peth fel y sain sydd a geir yn y gair Saesneg, '*b**o**ne*'. Nodwedd hollol *Fflinnaidd* ydyw hon, ac un eithaf wahanol hefyd, 'rwy'n meddwl. Gweler disgrifiad y gair '*hô*' isod ar dudalen 22.

‘Roedd hyn i gyd yn ddiddorol i mi i wybod er nad oedd y bobl yn fodlon defnyddio hyd yn oed un gair o Saesneg wrth siarad y Gymraeg â mi, nid oedd eu hacenion yn cuddio’r ffaith mai cryf iawn oedd dylanwad Saesneg ar eu tafodiaith!

## Effeithiau Seinegol

## Effeithiau Ieithyddol y Saesneg

Wrth gwrs mae Sir y Fflint wedi derbyn llawer o effaith oddi wrth Loegr, gallwn ddweud hyn heb amau, ac mae'n amlwg hefyd nad wyf ond yn sôn am ieitheg yma ychwaith! Wrth sôn am ieitheg, ac fel yr esboniais uchod, yn ogystal â geirfâu ac yn y blaen, derbyniodd Sir y Fflint ei hacen wrth siarad y Gymraeg gan y Saeson hefyd. Ond a ydyw'n deg dweud mai dim ond y Saesneg yn effeithio'r Gymraeg yn beth a oedd yn digwydd? A oedd dylanwad Cymraeg ar y Saesneg a chafodd ei siarad yng Nghymru, ac yn Sir y Fflint?

### Tafodiaith Saesneg y Bwcle – "Buckley"

Mae'n rhaid hefyd sôn yn dipyn am y dafodiaith Saesneg a siaredir yn Mwcle, sy'n dref fawr yn Sir y Fflint. Tebyg ydyw hon i dafodiaith Saesneg Sir Gaer a Sir Amwythig, sy'n dangos i le aeth ysbrydoliaeth y Saesneg pan ddaeth i Sir y Fflint. Yr enw a rydd i'r dafodiaith hon ydyw "*Buckley* [*Speak*]".

> ***"During the last two centuries [sef y ddeunawfed a'r bedwaredd ganrif ar bymtheg] English folk from Staffordshire have made their homes in Buckley"***

[*Edwards, J.M. 'Flintshire.' - td. 64*]

Peth arall sy'n braf meddwl amdano ydyw'r ffaith y benthyciodd tafodiaith Saesneg Bwcle eiriau gan y Gymraeg hefyd. Yn ôl y cylchgrawn "*Buckley**", ceir y gair '*nacky*' am '*berson call*' neu '*glyfar*'. Mae'r gair cytras yn Sir y Fflint, sef '*naci*', yn golygu rhywbeth sy'n '*fach ac/ond yn ddefnyddiol*'.

* '*The Origins of the Buckley Dialect*', Brian D. Hodnett, '*Buckley*' #33

Er derbyniodd y Gymraeg yn Sir y Fflint lawer o ddylanwad gan y Saesneg, ni ddigwydda beth fyddai rhywun yn ei disgwyl. Wrth siarad â phobl hen y sir, nid oedd gair o'r Saesneg yn eu Cymraeg. Ar ôl i mi ofyn paham mae hyn yn digwydd, cred y siaradwyr mai dylanwad eu rhieni oedd paham na wnaethant ddefnyddio hyd yn oed un gair o Saesneg wrth siarad.

Esboniodd y bobl y siaradais â hwy mai dim ond â'r cathod â'r cŵn wnaeth eu rhieni ddefnyddio'r Saesneg, yn ei disgrifio fel "*iaith cŵn a chathod!*" Imi, mae hyn yn ddiddorol iawn gan, a dweud y gwir, mai dim ond gydag anifeiliaid 'rwyf yn defnyddio'r Gymraeg pan af adref i Sir y Fflint. Yn ogystal ag anifeiliaid, 'roedd Cymry Cymraeg Sir y Fflint yn arfer gweiddi ar blant pan oeddent yn ddrwg yn y Saesneg. Dengys hyn mai iaith ddrwg oedd y Saesneg, ac, i bobl yr hen sir, 'roedd yn rhaid i blant wybod hynny.

Effeithiau Ieithyddol Ardal Rhosllannerchrugog

Mewn gwirionedd, mae tri pheth y hoffwn dynnu sylw atynt wrth sôn am ddylanwad Rhosllannerchrugog, sef y term '*nene*' (a'r sain '*-e-*'), yr gair am yr hyn a gaiff ei alw mewn Cymraeg safonol yn '*eira*', a'r tueddiad i ddweud pethau fel '*heddiw'r bore*' yn lle '*y bore hwn*.'

Mewn gwirionedd, esboniaf beth sy'n digwydd yn ieithyddol o ran y term '*nene*' a'r sain '*-e-*', felly hoffwn dynnu'ch sylw at dudalen 17 y traethawd hwn.

Yn Rhosllannerchrugog, gwelir y gair '*od/ôd*' am '*eira*'. Hyd y gwn i, yn anffodus, ni allaf ddod o hyd i air sy'n debyg i hyn mewn unrhyw iaith Frythoneg neu hyd yn oed mewn unrhyw dafodiaith Frythoneg[7]. Clywir "*ma' fo'n odi 'ŵan*" am "*mae hi'n bwrw eira 'nawr*" yn Rhosllannerchrugog, felly 'roedd yn braf clywed am y term '*odlaw*' sy'n cael ei ddweud yn Sir y Fflint. Term na chaiff ei

[7] Eira = *ergh* (Cern.) *erc'h* (Llyd.). Ynganiad y ddau: /:erx/

ddefnyddio yn Rhosllannerchrugog felly sy'n arbennig i'm sir i. Mae'n gwbl amlwg mai benthyciad gan dafodiaith Rosllannerchrugog ydyw'r term '*odlaw*,' ond nid ydyw'n digwydd mewn unrhyw dafodiaith arall, felly mae'n gwbl arbennig i Sir y Fflint y dyddiau hyn. Mae hyn y cyfateb i '*eirlaw*' mewn Cymraeg safonol.

Mae tueddiad mewn Cymraeg Rhosllannerchrugog i esbonio'r dydd mewn ffordd wahanol i weddill Cymru. Yn ôl hyn, 'rwyf yn sôn am y tueddiad i ddweud pethau fel '***heddiw['r] bore***', a ''***fory['r] p'nawn***'. Mae'r ddau derm 'rwyf wedi nodi yma'n golygu '*bore hwn*' a '*prynhawn yfory*.' Ni allaf ddod o hyd i reswm pendant am paham mae hyn yn digwydd, ond mae'n bendant gwir yn digwydd yn Sir y Fflint hefyd.

Rhoddaf ddarn o'r iaith a siaredir yn Rhosllannerchrugog isod er mwyn dadansoddi pa mor dylanwadol oedd y dafodiaith Rosllannerchrugog ar dafodiaith Sir y Fflint (trwy edrych ar dermau tebyg yn y ddau). Diolchaf i'r Dr. Ian Hughes am roi darn o bapur bro'r dref, 'Nene'[8], er mwyn i mi gael gweld ar yr iaith sydd yno;

*"<u>Oni'n</u> meddwl <u>'wrach</u> basech chi'n **leicio** <u>clŵed</u> stori am yr hen gar <u>odd</u> **gynnyn ni** <u>es dalwm</u>? Wel, <u>odd</u> cefnder y gwr <u>efo</u> hen Morus Mainor yn Llangollen ag <u>isio</u> **pâs iddi**. Pan **'ani** ofyn **iddow** faint <u>oddo</u> <u>isho</u> amdani – "deuddeg punt" **meddew** – wel, <u>oddi</u> ddim yn mynd i fod yn llawer o **gòp** am ddeuddeg punt a meddwl <u>basin</u> ddim yn <u>ponshio</u>, ond **dene** <u>fo</u>, <u>oddne'm</u> **harm** i fynd i **ddrychediad** arni"*

- Cafodd y ffurfiau sy'n arbennig i Sir y Fflint eu hysgrifennu mewn **llawysgrif drwm**
- Cafodd y ffurfiau sy' arbennig i'r Gogledd eu <u>tanlinellu</u>

[8] '*"Morun" yng nghwmni Stella Roberts*", Stella Roberts, '*Nene*'

Effeithiau Ieithyddol Ardal Caernarfon

Yn bendant yng Ngogledd Sir y Fflint, mae llawer o effaith Sir Gaernarfon a'i chyffiniau ar y Gymraeg yma. Byddai pobl yn disgwyl i hyn ddigwydd gan mai cryf iawn ydyw tafodiaith Gaernarfon ac byddai'n cael mwy o effaith ar dafodieithoedd eraill nag y byddai rhai bychain.

Mewn rhai achosion, mae'r gair Sir Gaernarfon wedi newid wrth gael ei ddweud yn Sir y Fflint. Well i mi roi enghraifft o hyn i esbonio beth feddyliaf:

| Cymraeg Safonol | Cymraeg Sir Gaernarfon | Cymraeg Sir y Fflint |
|---|---|---|
| **Glanhau** | llnau | cnau[9], clau |

Wrth sôn am ramadeg 'nawr, nodwedd a ddaeth i Sir y Fflint o Wynedd ac o ardal Gaernarfon ydyw'r modd o fynegi'r amser gorffennol arferol yn y Gymraeg. Yn wir, mae ffordd o gyfleu'r amser hwn wrth ddefnyddio'r term ''*roedd*' ond esboniaf hyn yn y man gan fod hyn yn gallu digwydd mewn ffordd '*Fflinnaidd*' hefyd!

Yn ogystal â'r term arbennig am ''*roedd*', mae ffordd yn iaith Sir y Fflint (a gweddill y Gogledd mewn gwirionedd) o ddefnyddio'r ferf '*darfod*'. Yn y Gogledd, ceir:

Ddar<u>fu</u> i mi fynd > **(Dd)ar'u mi fynd** = Es i

Pan ddar<u>fu</u> i mi fod > **Pan 'ar'u mi fod 'na** = Pan fues i yna

[9] Clywir hyn hefyd lawr ym Mhontarddulais, esboniodd cyfaill o'r lle i mi

Gan ei fod yn edrych fel mai'r term '*bod*' yn bodoli ar ddiwedd y gair, cafodd hyn ei droi yn '*fu*' er mwyn mynegi'r amser gorffennol. Wrth gwrs, mae'r sain '*dd-*' ar ddechrau'r term, yn ogystal â'r '*-f-*' a oedd yng nghanol y term, wedi cael eu hanwybyddu wrth siarad.

Yn Sir y Fflint, 'rwyf wedi clywed am ffurf '***ami***' / '***ani***' sy'n dod o'r un gwraidd.

**'Ami mi fynd** = Es i

**Pan 'ami mi fod 'ne** = Pan fues i yna

**'Ani (f)o brynu'r papur** = Prynodd ef y papur

**Pan 'ani ofyn** = Pan ofynnais

Gramadeg

'Roedd yn annisgwyliadwy yn ogystal â diddorol i mi ddysgu bod gramadeg y Gymraeg a siaredir ac a ddefnyddir yn Sir y Fflint yn gallu bod yn wahanol i'r safon, yn ogystal ag ond geiriau ac ymadroddion gwahanol. Mewn gwirionedd, ac wrth sôn am ieitheg, ni ddisgwylir tafodieithoedd bod yn wahanol o ran gramadeg ac yn y blaen. Disgwylir ond geirfâu a phriod-ddulliau i fod yn wahanol, onid ydym?

Er hyn, mae gwahaniaethau pendant rhwng gramadeg Cymraeg safon a'r hyn a geir mewn Cymraeg Sir y Fflint. Rhoddaf gipolwg i'r ffenomenon hon isod.

Amser Gorffennol Arferol – *'Roeddwn; 'Roedd*

Yn sgil clywed pobl Sir y Fflint yn siarad, yn enwedig yn ne'r sir, sylweddolais ar rediad gwahanol y term **'roedd**. Mewn Cymraeg safonol, disgwylir:

| Unigol | Lluosog |
|---|---|
| 'Roeddwn i | 'Roeddem ni |
| 'Roeddet ti | 'Roeddech ch(w)i |
| 'Roedd ef / hi | 'Roeddent hwy |

Mewn gwirionedd, digwyddir hyn yn Sir y Fflint yn wastad wrth ysgrifennu, ond wrth siarad, mae stori wahanol. Am ryw reswm, mae pobl yr hen sir yn tueddi i droi at derfyniadau'r amser presennol mynegol yn lle'r amodol/gorffennol arferol.

Yn Sir y Fflint, clywir:

| Unigol | Lluosog[10] |
|---|---|
| 'Rôddaf i | 'Rôddwn ni |
| 'Rôddi di | 'Rôddwch chi |
| 'Rôdda' fo/hi | 'Rôddan' nhw |

Hefyd: ***'rôdden' nhw***, mae'n debyg

Wrth anwybyddu'r acen dafodieithol, '-*ô*-', sydd ar gael ar ddechrau pob ffurf uchod yn lle '-*oe*-', mae'n gwbl annisgwyliadwy gweld y terfyniadau a ddefnyddir. Mewn Cymraeg safonol mai dyma'r terfyniadau a ddisgwylir yn yr amser **dyfodol / presennol arferol**. Ni ddisgwylir hwy wrth ddefnyddio ***'roeddwn; 'roedd*** sydd ond yn digwydd yn yr amser **gorffennol arferol**.

Nid oes esboniad sicr am hyn.

[10] Mewn gwirionedd, ni chlywais y ffurfiau lluosog o gwbl felly mae'n gwbl debyg nad ydynt yn bodoli yn y dafodiaith, ond dychmygais beth a ddisgwylir pe byddent yn bodoli uchod

<u>Rhediad yr Arddodiad- *â/ag, na/nag*</u>

**agetho' i  agethi di  agetho fo  agethi hi**

Mewn Cymraeg safonol, nid oes rhediad i'r arddodiaid **â**/**ag** neu **na**/**nag**. Mae rhediadau i'r arddodiaid hyn [*gant = gan/gyda/**â**/**ag***] yn y Llydaweg....;

| Rhediad '*gant*' yn y Llydaweg | |
|---|---|
| ganin | ganimp |
| ganit | ganeoc'h |
| gantañ / ganti | ganto |

.... ond nid yn y Gymraeg, fel y dywedais. Er hyn, mae rhediad tebyg mewn Cymraeg Sir y Fflint sy'n cyfateb i'r hyn a welwn yn y Llydaweg. Y rheswm pam cynhwysaf y termau Llydaweg ydyw dangos rhyw esboniad am y termau Sir y Fflint uchod. Efallai 'rwyf ond yn ceisio ffeindio rhyw gyswllt (sut bynnag mor gwan) i ddangos nad ydyw pobl Sir y Fflint yn siarad hollol lol!

Hyd y gwn i, ni ddigwydda'r rhediad *â/ag* neu *na/nag* yn y lluosog yn Gymraeg Sir y Fflint. Hefyd, gan nad ydynt yn rhediadau ysgrifenedig, ni allwn ond ddychmygu sut y byddent yn edrych ar bapur.

At y glust, gallwch glywed *(n)a**c**etho* yn ogystal â *(n)a**g**etho*. Dyna enghraifft arall o galedi seiniau yn y dafodiaith hefyd.

I rywun sy'n hoff iawn o eirdarddiad ac o hanesyddiaeth ieitheg, 'roeddwn i'n sicr i fynd ati i ddadansoddi lle gallai hyn ddod. Gyda chymorth y Dr. Rhisiart Hincks, des o hyd i ffurf Cymraeg Canol/Cymraeg Diweddar Cynnar[11] am '**gan**' sy'n cynnwys termau fel;

[11] D. Simon James, '*Gramadeg Cymraeg Canol*' td. 38

| Ffurf Cymraeg Canol | Ystyr Cymraeg Diweddar | Ffurf Cyfatebol Sir y Fflint |
|---|---|---|
| **ganthaw / gantho** | ganddo | agetho *(fo)* |
| **genthi** | ganddi | agethi *(hi)* |

Yma'n amlwg gwelwn debygrwydd rhwng y termau Sir y Fflint a'r rhai Cymraeg Canol, yn enwedig y sain <th> /θ/ sy'n bodoli yn y ddau. Mae'n amlwg hefyd y daeth y rhediad '**na**/**nag**' yn Gymraeg Sir y Fflint o'r rhediad '**â**/**ag**' + '**n-**'.

Dangos Perchen ar Rywbeth- Yr Arddodiad *gan*

Mae llwyth o ffyrdd er mwyn dangos perchen neu feddiant ar rywbeth yn y Gymraeg. Dengys hyn yn yr iaith safonol gan ddefnyddio rhyw ffurf yr arddodiad *gan*.

e.e. Dangos bod dyn yn perchen ar gath ►

| Cymraeg | Brawddeg |
|---|---|
| **Safonol** | Mae gan ddyn gath |
| **Deheuol** | Ma' cath 'da dyn |
| **Gogleddol** | Mae dyn efo c(h)ath |
| **Sir y Fflint** | Ma' dyn gyn/gin gath |

Fel y'u gwelwch, mae'r tri ffyrdd cyntaf yn gwneud synnwyr o ran gramadeg o leiaf, ond nid ydyw'r un Sir y Fflint yn gwneud synnwyr. Mewn gwirionedd, wrth ddefnyddio'r frawddeg uchod i ddangos meddiant, ystyr beth sy'n cael ei ddweud ydyw '*mae gan gath ddyn*' neu '*mae dyn at gath*.' Hefyd, byddwch yn sylweddoli nad oes treiglad (fel 'rwyf wedi dod i ddeall ac i glywed) yn dilyn y term '*gyn/gin*.' Nid oes ond un esboniad y gallaf ddod o hyd ato am hyn sef nad ydyw'r frawddeg yn gywir o ran gramadeg yn y lle cyntaf.

Cywasgiad a Thrawsosod

'Rwy'n cofio pan fyddai fy Nhaid yn siarad y Saesneg â'i gyfeillion, clywn gywasgiad a thrawsosod yn weithiau. Digwydd cywasgiad er mwyn i siaradwr iaith ddweud rhai geiriau'n haws. Enghraifft cynharach y fedraf feddwl amdano ydyw mewn Hen Wyddeleg (libur[12] =*llyfr* > lebraib[12] =*llyfrau*) neu hefyd yn y Gymraeg heddiw wrth luosogi - lly**thy**ren > lly**thr**ennau. Mae trawsosod yn cynnwys y newidiad o rhai seiniau (cytseiniaid gan amlaf) yng nghanol geiriau, fel gallwch glywed wrth i bobl Caernarfon adrodd enw eu tref, sef; C'na**fr**on. Digwydda hyn wrth fynd o'r Hen Gernyweg i Gernyweg Canol hefyd. Cred yr ieithydd Joseph Biddulph 'roedd term yn y Hen Gernyweg sy'n cyfateb i '*defnydd*' yn y Gymraeg. Er mai'r term Cernyweg modern ydyw '*defnydh*,' esbonia Biddulph[13] mai '*denfedh*' oedd y gair cyntaf. Ceir cywasgiad amlwg yma hefyd.

Cofiaf fy nhaid hefyd, wrth wylio'r pêl-droed ar y teledu neu wrthi ei drafod gyda rhywun, yn dweud '*palenty*' /:palənty/. Gwelwn yma gywasgiad sy'n arbennig i iaith Sir y Fflint - er mai yn y Saesneg ydyw. Es ati i geisio dadansoddi a wnaeth hyn ddigwydd ar unrhyw adeg yn Iaith Sir y Fflint. Rhestrwyd y ffurfiau a wnes i'w clywed isod:

| Gair Cymraeg | Ynganiad Safonol | Ynganiad Sir Fflint |
|---|---|---|
| **Darfod** | /darvɔd/ | /davrɔd/[14] |
| **Canfod** | /canfɔd/ | /cafnɔd/ |
| **Colreg** | /cɔlreg/ | /cɔrleg/[15] |

[12] Cyflwr Dderbyniol
[13] Biddulph, J., '*A Handbook of West Country Brythonic....*' td. 11
[14] Gyda rhyw fath o sain '*d*' galed ar ddiwedd y gair > yn debyg i /t/. gw. isod.
[15] Gair sy'n arbennig i Sir y Fflint ydyw hyn. Fe'i esboniaf wedyn- td. 12

Caledi Seiniau

Nid wyf wedi bod yn gyfarwydd â chaledi (o ran fatha dreiglad) erioed, ond yn y Wenhwyseg, neu hyd yn oed yn y Llydaweg (lle ceir ei enwi yn y treiglad cymysg). Yn ôl caledi, meddyliaf am eiriau fel '*po**p**l*' yn lle '*po**b**l*' fel a glywsoch yn y Wenhwyseg (Cymraeg Went a'i chyffiniau). A dweud y gwir, tebycach[16] at yr Hen Iaith Gymraeg ydyw hyn cyn i'r Frythoniaid ddechrau ynganu geiriau Lladin gydag acen 'Gymreig' fel y'i chlywn heddiw (hynny ydyw- me**dic**[us] yn cael ei ynganu fel /me**δ**i**g**/[17] ar ôl i feddalu mewn geiriau ddigwydd).

Felly pam godwn y pwynt yma wrth sôn am iaith Sir y Fflint? A gallwn ddweud yn siŵr, 'rwyf wedi cael fy ngofyn yn llawer gwaith wrth godi'r pwynt hwn.

Yng Nghoed-llai, lle y cefais fy magu, lle y galwaf yn 'adre,' ni thynnais llawer o ddiddordeb pan fyddai rhywun yn sôn am y '*stryt*.' Heb Gymraeg pan oeddwn yn ifanc, ni sylweddolais mai gair Cymraeg oedd hyd yn oed. Mae stryd o'r enw '*Stry**t** Cae Rhedyn*' yng Nghoed-llai, stryd 'roedd hen bobl y pentref yn cyfeirio ati pan wnaethant sôn am '*[the] stryt*' /strɪt/ /stri:t/. Gweler esboniad manwl ar gyfer y gair hwn ar dudalen 23.




Fel gallwch weld oddi wrth y llun uchod ▲, mae llawer o enghreifftiau yn y pentref o'r term a gaiff ei derfynu yn '*t*' yn lle'r '*d*' gyffredin. Meddyliaf fod rhaid i mi godi'r pwynt fod y gair '*stryt*' yn bodoli ar arwydd(ion) yng nghanol y dref yn Wrecsam hefyd, sir arall cynhesed i Sir y Fflint! Er gallai hyn ond fod yn gamgymeriad, mae ochr chwilfrydig fy meddwl am gredu ei fod yn bendant gwir yn air tafodieithol Gogledd-ddwyrain Cymru! Efallai, ffordd orau y gallwn esbonio presenoldeb y term

[16] DS; caledi o ***g***>***c*** yn y gair '*tebycach*' hefyd!
[17] Ceir meddalu o <d> = /δ/, a <c> = /g/.

‘*stryt*’ yn Wrecsam a’i sir ydyw’r ffaith cyn 1974 (gweler y llun ▶), ‘roedd rhan o Sir y Fflint (Maelor Saesneg) lle y gwelwn ni Sir Wrecsam heddiw. Dengys hyn mae pobl ‘nawr sy’n dod yn wreiddiol o deuluoedd Sir y Fflint yn byw yn beth sy’n cael ei alw heddiw yn Wrecsam. Er nad ydynt o hyd yn byw yn swyddogol yn Sir y Fflint, mae eu hen iaith wedi dal gydag hwy.



Hefyd, a chyda’r syniad o gywasgiad, es ati i ffeindio allan a wnaeth bobl Sir y Fflint gynnwys caledi yn eu hiaith bob dydd....

Wel, ‘rwy’n cofio’n sicr glywed termau fel “*’i mapi*” [sef ‘ei mab hi]. Gallwn weld yma, er mai achos y sain <h> /h/ sy’n dilyn y gair ‘*mab*’ ydyw hi, galedi ar y sain <b> /b/. Mae hyn yn cael ei esbonio’n fanwl gan Beth Thomas a chan Peter Wynn Thomas yn eu llyfr, “*Cymraeg, Cymrâg, Cymrêg.... Cyflwyno’r Tafodieithoedd*[18]”:

> ***“Dyma ffurf nodweddiadol ogleddol: yr hyn a glywn yn y*** **t** ***yw canlyniad ymdoddi’r*** **d** ***a’r*** **h** ***yn llwyr” .... “a cheir datblygiad tebyg pan ddaw*** **b** ***ac*** **g** ***ar ddiwedd geiriau ac*** **h** ***yn eu dilyn, e.e. ‘i mapi ‘ei mab hi’, ‘i checi ‘ei cheg hi’.”***

Mae’n gwbl bosibl y daw’r caledi hwn o Gymraeg Canol lle mae rhai gytseiniaid yn caledi cyn y sain /h/, e.e. Dywe**d** (= dweud) + -**h**wyf (Terfyniad Cymraeg Canol Presennol Dibynnol) > Dywe**tt**wyf. Yn yr achos hwn, try’r <d> /:d/ yn <tt> /:t/, fel y’i gwelwch.[19]

[18] Beth Thomas a Peter Wynn Thomas, “*Cymraeg, Cymrâg, Cymrêg.... Cyflwyno’r Tafodieithoedd*” td. 104
[19] D. Simon Evans, ‘*Gramadeg Cymraeg Canol*’ td. 4-5

Seiniau Arbennig

Y Sain '-*e*'

"*Hwnne fanne ydi o!*"... Neu yng Nghymraeg safonol; "*Hwnnw yn y fan yna ydyw!*"

Wel, o leiaf nad oes rhaid i bobl Sir y Fflint gystadlu ag ymadroddion fel "*fe fanco yw e*" neu "*wnco mwnco yw e*".... sy'n golygu'r un peth yn Ne Cymru!

Felly wrth wybod mae'r sain '**a**' gan amlaf yn troi'n '**e**' yn iaith Sir y Fflint, a ydyw'n deg disgwyl llafariaid eraill yn gwneud yr un peth? Yn ôl hyn, meddyliaf am y term '**fo**' am '**ef**' sydd ar gael dros Ogledd Cymru i gyd. A ydyw'n deg disgwyl newidiad o '**fo**' i '**fe**' yn Sir y Fflint hefyd? Wel a dweud y gwir, wrth siarad â phobl y sir, mai dim ond y sain '***na***' yn troi yn '***ne***,' yn lle ond y sain '*a*' droi yn '*e*.' Pan glywais oddi wrth ffrind a ddaw o Sir y Fflint (a gafodd ei addysgu yn y sir hefyd) fod cynhwysa rhai geiriau yn nhafodiaith Sir y Fflint rhyw fath o sain '-*ne*' ar ddiwedd rhai geiriau arbennig, 'roedd yn anodd i mi osgoi ei ddefnyddio wrth i mi siarad. Gan ddysgwr ydw i, 'rwy'n siŵr fod yn hawdd fy ysbrydoli o ran yr iaith 'rwyf yn ei defnyddio. Felly, mae'n digon cyffredin yn fy Nghymraeg heddiw i gynnwys y 'ffenomen' hon.

Fel a ddigwydd ym Mhowys, gellir glywed y sain /e/ yn lle'r /a/ gyffredin sydd a gaiff yn yr iaith safonol. Er enghraifft, gallwch glywed y gair '*b**e**ch*' am '*b**a**ch*' yn y sir mwyaf Cymru, yn ogystal â llwyth o eiriau sy'n gwneud newidiad seinegol tebyg. Digwydd hyn, fel mae rhan fwyaf o ysgolheigion yn dadlau, o'r oes Hen Gymraeg > Cymraeg Canol pan ddatblygodd y sain /a/ > /ɛ(i)/ wrth luosogi mewn rhai geiriau. Gallwn weld ôl troed yr hyn a ddigwyddodd tua mil o flynyddoedd yn ôl yn yr iaith safonol heddiw, er enghraifft wrth luosogi'r gair *bardd* i fod yn *beirdd*, lle try'r sain /a/ yn /ɛi/.

O ran Sir y Fflint, gall rhywun glywed newidiad seinegol tebyg heddiw. Fel y dangosais uchod gyda'r ymadrodd "*hwnne fanne*," mae rhai o eiriau Sir y Fflint yn troi'r sain /a/ yn /e/. Clywais yn Yr Wyddgrug rhai blynyddoedd yn ôl yr ymadrodd "*dyne fo!*" Ers hynny, clywais bethau fel "*dene fo!*" hefyd. Yma, mae'r newidiad hwn yn hawdd ei weld. Ond a ydyw'n well dweud y sain '*-ne*' ydyw'r hyn a fyddaf yn esbonio, nid '*-e*'?

O Rosllannerchrugog ydyw'r sain '*-ne*' mewn gwirionedd, gyda phapur bro'r lle yn cael ei alw yn 'Nene!' Trwy wybod hyn, 'roedd yn ymddangos i fi fel rhywbeth nad oedd modd i mi'i osgoi. Daw digon o ddylanwad ieithyddol oddi wrth y dwyrain a Lloegr ac oddi wrth y gorllewin a Sir Gaernarfon. Gyda dim ond y môr uwch ein pennau, 'roedd yn amlwg y dylem ni'n disgwyl dylanwad yn codi o'r dde.

Yn ogystal â *hwnne fanne* a *dene fo*, clywais air arbennig. Gair a oedd yn fwy ddiddorol i mi nag un o'r rhai a drafodais uchod, sef '*ene*!' Mewn Cymraeg safonol, ac mewn gwirionedd ym mhob tafodiaith yng Nghymru, '*yna*' ydyw '*ene*' yn yr hen sir.

"*O mae hi'n byw lawr ene yng Nghaerdydd, chi'mo'?*" -Megan Williams[20]

Wrth gwrs, imi 'roedd yn rhaid edrych ar hyn gyda llygaid Celtaidd! Mewn tafodiaith Gernyweg mae'r gair '*enno*' ar gael i olygu '*yno*.' Yn yr un modd, mae'r Llydaweg yn esbonio '*yno*' gan ddefnyddio '*eno*,' Oes, mae dal i fod sain '*-o*' ar ddiwedd y gair, ond gallwch weld o ble y gallai cywasgiad posibl ddod.

Wrth fynd yn ôl at iaith Rosllannerchrugog, mae'n debyg y daeth eu sain '*-ne*' gan Bowys a'i seiniau '*a*' yn troi yn '*e*.' Mae'n digon cyffredin 'nawr yn y lle, a thros ardal Rhos i gyd i glywed y sain hon, ac nid oes esboniad gwell amdani'n codi i Sir y Fflint.

Ond a ydyw hyn yn beth sy'n digwydd ledled y sir? Yn ôl Ieuan ap Siôn, drigolyn y sir sy' dal i ddefnyddio ei dafodiaith yn falch iawn;

[20] Gwraig laeth yn gwasanaethu o Goed-llai i Lanfynydd.

*"Mae pobl Ffynnongroyw, Mostyn a lawr am Y Rhyl efo 'a' gadarn – 'panad' neu 'gadar'.... I mewn i ganol y sir i ochr Yr Wyddgrug mae'r 'a' yn troi yn 'e'- 'paned' neu 'gader' - ac ymhellach am Dreuddyn, Nercwys a Rhydtalog mae'r 'e' yn mynd yn feinach a'r 'ene fene' fel trigolion Y Rhos yn amlygu."*

Y Sain ‘*(-)o*’

Fel ‘rwyf yn siŵr ‘rydych yn gwybod, mai term y Gogledd am ‘*ef*’ (neu *it* / *him* yn S.) ydyw ‘*(-)o*.” Wrth wrando ar bobl y sir yn siarad, ‘roeddwn yn chwilfrydig clywed mai ‘*æ*’ fer neu ‘ə’ fer ydyw’r sain. Yn ôl hyn, ‘rwyf yn ceisio golygu ei bod yn sain sydd wedi cymysgu rhwng ‘*o*’ ac ‘*e*.’ Rhyw fath o ‘hanner ffordd’ rhwng y ddwy. Credaf y gallai hyn wedi digwydd oherwydd mewn Gogledd sy’n hoff o’r sain ‘*o*,’ ac mewn sir sy’n hoff o seiniau’r De fel ‘*e*,’ mae wedi bod cymysgedd rhyngddynt.

Mewn gwirionedd, gallai hyn ddigwydd am lwyth o resymau. Ar ôl y gair ‘*ydi*’ (= ydyw), gallai clymu rhwng y termau gwahanol ddigwydd wrth ychwanegu sain /o/ <o> at sain barod fel /i/ <i>. Fel, try <ydi o> /ədi ɔ/ yn <ydi o> /ədjɔ/ yn Sir y Fflint.

Y Sain ‘*-si-*’, ‘*-is-*’

Hefyd fel y Wenhwyseg, gallwch glywed y sain /ʃ/ <-si-, -is-> yn bodoli yn iaith Sir y Fflint. Mewn gwirionedd, gallwch glywed y sain hon (yn enwedig y sain wrth ddweud <-si-> o Gaergybi i Gaerdydd a thros Gymru i gyd, ond yn bennaf dim yn Went, ac yn Sir y Fflint. Er hyn, gan rai o bobl a gawsant eu magu yn y de o Sir y Fflint, nid oedd neb yn ei defnyddio. Mae’n edrych fel mae gogledd y sir wedi cymryd sain deheuol yng Nghymru (a sain Gwyddeleg!), ac mae de’r sir wedi cymryd sain sy’n weddol ogleddol yng Nghymru.

Geiriau ac Ymadroddion Arbennig

A dweud y gwir, teimlaf yn dipyn fel Edward Lhuyd a phan aeth efô dros Gymru gyda'i holiadur yn gofyn am eiriau a oeddent yn arbennig i ryw lle penodol. Mewn gwirionedd, SURVEY o dafodieithoedd oedd hyn, a chafodd ei gynnwys yn llyfr Lhuyd ym 1707, sef *Archaeologia Britannica*. Fel Lhuyd, 'rwyf hefyd am gynnwys rhai geiriau 'arbennig' a wn i amdanynt yma yn fy nhraethawd. Geiriau sy'n arbennig i Sir y Fflint.

Meddyliais fynd ati i gynnwys rhestr termau tafodieithol sy'n arbennig i Sir y Fflint, hyd yn oed cyn i mi sylweddoli fod llyfr yn bodoli sy'n tynnu sylw'n gyfan gwbl am iaith y sir – sef "*Iaith Sir Fflint - Geirfa a Thafodiaith y Gymraeg yn yr hen sir*" gan Goronwy Wynne[21], academydd yn wreiddiol o Licswm yng ngogledd y sir. Mae'r llyfr hwn yn cynnwys llawer o eiriau a wnaeth Daniel Owen eu cynnwys yn ei nofelau, yn ogystal â rhai o dermau a wnaeth Wynne ei hun eu clywed. Byddaf yn cyfeirio at y llyfr hwn yn awr ac yn y man er mwyn esbonio rhai termau. Yn anffodus, neu'n ffodus (yn dibynnu ar sut yr edrycha rhywun arno), nid ydyw llyfr Wynne yn cynnwys pob gair y'u clywais wrth fynd dros y sir. Cynhwysa'r rhain yma yn ogystal. Hefyd, yn ôl fy hoff ddiddordeb, mewn rhai achosion hoffwn geisio taflu goleuni ar eirdarddiad, a lle, efallai, ddaeth rhai o'r termau hefyd.

D.S. Gellir clywed geiriau yn y sir lle'r try '*e*' yn y goben yn '*a*'. Esboniaf hyn uchod. Mae Wynne yn tueddi i ddefnyddio '*e*'. Fe'u dangosaf y geiriau wrth ddefnyddio'r ddau, ond tynnaf sylw yn y rhan fwyaf o achosion at y ffaith y gallent gael eu hysgrifennu ag '*a*' neu ag '*e*'.

e.e. "**catal**" /:catal/ yn lle 'gwartheg' > D.S. Clywir "**catel**" hefyd.

[21] Goronwy Wynne "*Iaith Sir Fflint - Geirfa a Thafodiaith y Gymraeg yn yr hen sir*"

Y Geirfâu a’r Ymadroddion

*Dyma rhai o wahanol eirfâu ac ymadroddion y des o hyd atynt gan siarad ag Ieuan ap Siôn (Treffynnon) ac ag Elwyn Roberts (Yr Wyddgrug, yn wreiddiol o Goed-llai). Sylweddolwch daw rhai o’r termau isod yn syth o’r Saesneg, neu o gymreigio term Seisnig.*

“**chwarae’r hen**” yn lle ‘dweud y drefn’

“**ca’l pas (*pâs*) i**” yn lle ‘cael gwared o’

“**mawion**” yn lle ‘morgrug’ / ‘myrion’

“[**y**] **graig**” yn lle ‘chwarel’

“**uswydd**” yn lle ‘cerpyn’

“**pridd y wal**” yn lle ‘pridd y wadd’

“**paid â ‘neud trefn**” = ‘paid â gwneud anrhefn’

“**fflwars**” yn lle ‘blodau’

“**cecas**” yn lle ‘lludw’

“**person acas**” = ‘person deniadol’

“**gol’ar**” yn lle ‘golau ar(no)’

“**chwarae**” yn lle ‘canu [offeryn]’

“**gwylia’**” yn lle ‘[y] Nadolig”

“**sbensh**” yn lle ‘cwpwrdd dan y grisiau’

“**syrcin**” = ‘fest’ (‘*Jerkin*’ mewn tafodiaith ‘Buckley’) “**lleban**” yn ‘cur pen’ (lled + pen)

“**person naci**” = ‘person sy’n gallu gwneud llawer,’ ‘Siôn bob swydd’

“**chyd o ‘ne!**” = cyfateb i’r Saesneg: “*come on then!*” /tʃi̞d o: nɛ:/

“**ugatre**” = [t]u[a]g adre[f] (+ <d> calediad /t/). “’Dw i’n mynd **ugatre**” = ‘Rwy’n mynd tuag adref

Hefyd gan Ieuan ap Siôn, clywais am eiriau a oedd yn bendant yn eiriau Cymraeg, ond a chawsant ryw fath o dwist *Flinnaidd* arnynt. Dyma rai ohonynt gyda’u hystyron Cymraeg safonol â hwy (*Cymraeg safonol yn gyntaf*):

- rhoi = **rhoid**
- gwelyâu = **gwelŷe**

- heol / ffordd = **hewl**[22]
- Yr Wyddgrug = **Wyrgrug** (*colli sain <dd>*)[23]
- Saesneg = **Sasneg**
- Lerpwl = **Lerpwr**
- camfa = **gafna** (*c>g, m>n, cywasgiad mf>fn*)
- Helygain = **Lygian** (*colli 'He-', try -ai- yn -ia-*[24])
- cyfenw = **snâm** (o 1. '***syrnâm***' 2. Saes. *[hi]s name*)

---

Wrth siarad â Mrs. Mary Roberts [Plas ym Mhowys, Treuddyn/Coed-llai], 'roedd yn ddiddorol i mi weld geiriau na chawsant eu sôn amdanynt yn llyfr Goronwy Wynne. Mewn gwirionedd, o eiriau a wnaeth Wynne eu casglu, nid oedd ond tua 10% ohonynt yn union beth a glywais amdanynt gan Mrs. Roberts. Credaf fod hyn y wir gan mae rhan fwyaf termau Wynne yn tueddi i fod yn eiriau a wnaeth Daniel Owen eu defnyddio yn ei iaith, nid hollol iaith Sir y Fflint i gyd. Hefyd, ni aeth Wynne ati i gynnwys termau a wnaeth eu ffeindio ym Maelor Saesneg y sir. Esboniaf hyn ar dudalen 19. Rhestraf rai o dermau arbennig Mrs. Roberts yma:

D.S. 'Rwyf wedi nodi hefyd ym mha geiriaduron y digwydda'r termau isod:

{CS} = The Collins-Spurrel Welsh Dictionary, 1960

{GA} = Geiriadur yr Academi, 1995

{GW} = Iaith Sir Fflint - Geirfa a Thafodiaith y Gymraeg yn yr Hen Sir, Goronwy Wynne, 2005

{x} = *Nid ydyw'r gair yn bodoli mewn unrhyw un o'r geiriaduron uchod*

[22] Mae'r term hwn ar gael yn y Gernyweg am '*heol*', ac yn iaith rannau o Dde Cymru
[23] Efallai daw'r *r* yn lle'r *dd* o gwasgiad gyda'r '*yr*' a gollwyd ar ddechrau'r term gwreiddiol
[24] Fel ynganiad '*(h)ugain*' yn Sir y Fflint > '*ugian*'

**Aflawen** [ans.] = Blêr, Anhrefnus, Digysur. {CS, GW}

**Anwiredd** [eg] = Celwydd[au]. Er mai gair Cymraeg safonol ydyw hwn, mae'n swnio'n fwyaf cyffredin yn Sir y Fflint. Ceir yr ymadrodd "*peidiwch deud **anwiredd***" yn lle "*peidiwch [â] dweud celwydd[au]*". Yn anffodus, nid ydyw myfi na Mrs. Roberts yn medru dod o hyd i reswm am hyn. {CS, GA}

**Ar gêt** = Prysur, ar waith. Gair a ddefnyddid yn Nhreuddyn ond ni wn ddim am ei darddiad. {GW}

**Bosle** [eg] = Lle mae pobl yn eistedd ar gyfer bwyd wrth y bwrdd fwyta yn arferol. "*Pawb i'w **bosle***". Dywedid hyn wrth blant gan eu rhieni er mwyn gadael iddynt wybod 'roedd eu bwyd yn barod. Wrth glywed ynganiad y gair, sef /bɔs ləi/, mae'n debyg iawn y daw hyn i iaith Sir y Fflint yn syth o'r Saesneg; '*boss lay*', sy'n golygu rhyw fath o brif sedd neu fan. {x}

**Bricsiwn** [ans.] = 1) Helynt 2) Drwg, gwael, direidus. Ceir '***pricsiwn***' hefyd. {GW}

**Brijen** [eb] = Gwraig neu ferch sbeitlyd faleisus. O fratiaith y Saesneg: '*bitchy*'. {x}

**Codlo** [b.e.] = 1) Ffidlan 2) Gwneud rhywbeth di-fudd 3) Bod yn amddiffynnol iawn, maldodi, mwytho. O'r Saesneg '*mollycoddle*'. {GW}

**Corleg** [eb] = Hof ar gyfer glo. O'r Saesneg '*coal rake*'. Digwydd fel '*co**l**re**c***' hefyd lle gwelwn trawsosod a chaledi hefyd. {GW}

**Cynnwys** [b.e.] = Darbwyllo, perswadio. {GW, GA}

**Chwit** [eb] = Cariad. {x}

**Dyn llwyddiannus** [ans.] = Dyn sy'n ennill mwy o arian na all ei wraig ei wario. {x}

**Gingron** [eg] = Dyn gwawdlyd, sarcastig. Cyfateb i'r weithred o alw dyn yn '*shark*' yn y Saesneg. Efallai daw'r term Cymraeg yn ôl y blodyn '*llysiau'r **gingroen***' (Senecio Jacobaea) - Peryglus i wartheg mewn meintiau mawr. {x}

**Gwaed yr Aer** [ymadrodd] = Defnyddir hyn i olygu rhywun sydd wedi cael ei orchuddio â gwaed. Hen air am '*rhyfel*', '*brwydr*' yn y Gymraeg = '***aer***'. Cyfateb i'r Saesneg '*in the wars*'. Golwg ar rywun fel pe bai wedi bod mewn brwydr. Clywid hyn yn aml yn y sir tua 50 mlynedd yn ôl, esboniodd Mary. {x}

**Gwapyn** [eb]; **Gwapas** [ell] = Gwenynen Feirch (*llu. Gwenyn Meirch*). Ceir y term hwn o'r Saesneg, mae'n debyg. Cofiaf ddefnyddio'r gair '*wappers*' yn dafodieithol yn y Saesneg wrth gyfeirio atynt. {x}

**Gwraig lwyddiannus** [ans.] = Merch sy'n 'bachu' dyn fel yr uchod[25]. {x}

**Hambygio** [b.e.] = Brifo, poenydio, ymosod [at]. {GW, GA}

**Hidio** [b.e.] = Poeni, peryglu. Ceir yn aml yn Rhosllannerchrugog ac ardal Wrecsam. O'r Saesneg '*heed*'. {CS, GW

**Hô** [eb] = Hof. Ynganu fel y Saesneg '*hoe*'. {x}

**Hoelion wyth** [ymadrodd] = Dibwynt, diangen. "*Be' ydi' pwynt cael* ***hoelion wyth*** *mewn plancie' modfedd?*". {x}

**Horsen** [eb] [Hefyd: **Horsan**] = Gwraig neu ferch wrywaidd drahaus. {x}

**Lladd** [ans.] = Ffeindio bai ar rywun. {GW, GA}

**Palff** [ans.] = Cryf, cadarn, mawr. Caiff ei ddefnyddio gan amlaf wrth ddisgrifio pobl. "*Palff o ddyn*". {SP, GA}

**Propor** [ans.] = 1) Go iawn, gwir. O'r Hen Ffrangeg '*propre*' neu o'r Saesneg '*proper*'. 2) Hardd, pert, prydferth. {x}

**Sboner** [eg] = Cariad. {x}

[25] Gweler: ***Dyn llwyddiannus***

**Sgithyn** [ans.] = Ychydig bach. Saesneg: '*skiff*'. Ceir ei ddefnyddio'n aml wrth sôn am eira. *"As luck would have it there had been a* ***skiff of snow*** *the night before and they were all on their low ground."*[26] Peidiwch â chymysgu ystyr y term hwn â'r gair Saesneg safonol am '*skiff*' sy'n golygu rhyw fath o gwch ar gyfer un person. {GW '*sgit*'}

**Sgwlio** [b.e.] = Dweud y drefn. Byddai mamau'n '*sgwlio*' eu plant. Cyfateb i'r Saesneg '*scowl*'. {GW}

**Stem fer** [ans.] = Daliad byr mewn gwaith. {GW, GA}

**Stryt** [eb] [Hefyd: **Stryd**]; **Strydoedd** [ell][27] = Fel Cymraeg safonol. Dim ond sillafiad sy'n wahanol yma. Ceir y ffurf gyda chalediad (d>t) yn ne-ddwyrain y sir yn unig. Benthyciad o Saesneg Canol '*stret*'. Gweler '*Stryt Cae Rhedyn*' yn Nghoed-llai, '*Pen Stryt*' yn Llanfynydd a '*Stryt Isa*' yn Yr Hôb. {GW}

**Tatched** [ans.] = Darn bach. /tatʃɛd/. Gweler; '*sgithyn*'. Mwyaf arferol na '*sgithyn*'. Cyfateb efallai i'r Saesneg '*touch'* i olygu darn bach, tamaid?. {x}

**Tê** [= te] **Slecyn** [eg] = Te (neu ryw ddiod poeth arall) wedi'i wneud trwy roi colsyn / marworyn mewn dŵr (pan fo'r "*slecyn*" yn goch (poeth). Addas, clywaf, i fabi er mwyn ei helpu i dorri gwynt! Gweler y term "*tê cols*" sydd ar gael i'w glywed yn Sir Gaernarfon i olygu'r un peth. {x}

**Trwmp** [eb] = Gair sy'n cael ei ddefnyddio'n aml iawn ymysg plant yn lle '*rhech*'. **Trympio** [b.e.] = Rhechu. {GW}

**Tynnu Cwtyn** [eg] = Penderfynu; Saes. '*to draw lots/straws*'. Y weithred o benderfynu pwy sydd yn orau o ddau neu fwy. Efallai daw'r term '*cwtyn*' o '*cwta*' = bach, byr. {GW}

**Wâst** (**yn y**) [ymadrodd] = Gwastraffus. Saes. '*waste*'. {GW '*wast*', GA}

---

[26] Syr John Scott - Rhan o'i erthygl ar ddefaid yn "*Family News*"
[27] Ni ddigwydda'r term '*stry**t**oedd*' o gwbl

Meddyliaf hefyd fod rhaid tynnu sylw at y gair am '*wythnos*.' Ar ôl i mi glywed rhai termau am hyn, 'roedd un a wnaeth sefyll allan yn amlwg fel gair Sir y Fflint, sef '*wsoth*' [= wythnos]. Yn ogystal â'r ffaith mai ffurf arbennig ydyw hyn, ni all neb osgoi'r ffaith bod trawsosod hefyd yma'n digwydd, lle mae'r <th> a'r <s> yn cyfnewid eu lle. Mewn gwirionedd, tueddir i glywed y term '*wsos*' mewn rhannau eraill Gogledd Cymru sy'n pwysleisio pa mor cyffredin oedd trawsosod yn iaith Sir y Fflint. Mewn gwirionedd, clywir pob ffurf y gair '*wythnos*' yn Sir y Fflint.

Un gair arall a wnaeth Mary Roberts, Ieuan ap Siôn a Goronwy Wynne hefyd dynnu sylw ato oedd '*shipon*' sy'n golygu *beudy*. 'Roedd hyn yn ddiddorol i mi wrth i mi glywed am dafodiaith (Saesneg) Bwcle. Esboniaf hyn uchod wrth sôn am effaith y Saesneg yn Sir y Fflint. Daw'r gair '*shipon*' o dafodiaith Saesneg Bwcle (oddi wrth Saesneg Sir Gaer a Sir yr Amwythig), a chan y gair '*shippon*' /ːʃipəˈn/ sy'n cael ei defnyddio yn y siroedd hyn.

Geiriau Gogleddol a Ddefnyddir yn Sir y Fflint

Gan mai sir yng Ngogledd Cymru ydyw Sir y Fflint, disgwylir rhan fwyaf yr iaith a ddefnyddir yn y sir i fod yn Ogleddol hefyd. A dweud y gwir, mae hyn yn gywir. Ar ôl gofyn i bobl iaith gyntaf y sir, nid ydyw geiriau fel '*mas*,' '*lan*,' neu '*mo'yn*' yn bodoli. Mewn gwirionedd, pan nad ydyw'r ffurf o beth sy'n cael ei ddweud mewn Cymraeg Sir y Fflint yn perthyn yn arbennig i dafodiaith y sir, erys yr iaith yn ogleddol iawn.

Wrth wrando hefyd ar bobl y sir yn siarad yr iaith, 'roedd yr iaith a ddefnyddid yn ddiddorol i mi. Nid oedd sôn am air Saesneg yn eu siarad. 'Roedd hyn yn ddiddorol i mi wrth wybod mai ar y ffin i Loegr ydyw Sir y Fflint. Pan ofynnais iddynt paham nad oedd llawer o Saesneg yn eu hiaith, derbyniais ateb a oedd wastad yn union yr un ateb fel y derbyniais gan bawb: "*iaith cŵn a chathod ydi o!*" Nid oedd rhieni'u plant yn derbyn y Saesneg o gwbl gan mai iaith yr estroniaid ydoedd. A dweud y gwir, clywaf mwy o Saesneg yn iaith Geredigion nag yn iaith Sir y Fflint. Wrth gwrs, mae'n rhaid dod o hyd i'r siaradwyr yn gyntaf, ond sylweddolir hyn wrth eu ffeindio.

Coed-llai

***"Leeswood (Coed Llai) [heddiw: 'Coed-llai'], a village near Mold*** **[Yr Wyddgrug]*****, is famous for its collieries. Cannel coal was once found in large quantities, but the seam is now exhausted"***[28]

---

***"Saif pentref Coed-llai, gyda Queen Street ac Albert Street, yn ochr orllewinol i'r afon [*****Afon Alun*****], ac er mwyn cyrraedd yno y mae gofyn troi i fyny ym Mhont-y-botcin [*****bellach: Pontybotgin*****], yn ymyl stesion Coed Talon, neu'n hytrach lle y safai'r stesion gynt"***[29]

---

Bu'r iaith Gymraeg yn gryf yng Nghoed-llai yn wastad, wrth ei chymharu â gweddill Sir y Fflint. O ran profiad personol, a bod yn yr ysgol yng Nghoed-llai, 'roedd yr iaith Gymraeg wastad yn cael ei siarad a'i defnyddio trwy'r amser. Pan wnes brofiad gwaith yn Ysgol Terrig, Treuddyn, 'roedd yn ardderchog gweld cymaint o'i disgyblion yn dod o Goed-llai hefyd. Enw clwb chwaraeon a chymdeithas y pentref ydyw '*Coed Llai*[30] *Sports and Social Club*' ac o ran yr iaith ei hun, o'r pedwar myfyriwr ar ddeg a oedd yn fy nosbarth Cymraeg lefel A, 'roedd saith ohonynt yn wreiddiol o Goed-llai.

[28] Edwards, J. M. '*Flintshire*' td. 164
[29] Ellis, T. I. '*Crwydro Sir y Fflint*' td. 91
[30] 'Coed Llai' ydyw'r gair a welir ar arwydd y sefydliad

Yn ôl cyfrifiad 2001, mae o boblogaeth Goed-llai yn medru'r Gymraeg. A dweud y gwir, 'rwyf yn disgwyl gweld y niferoedd yng Nghoed-llai yn codi, yn bendant o leiaf pan ddaw'r cyfrifiad nesaf yn 2011. I bwysleisio pa mor hyderus wyf am weld y niferoedd yn codi, hoffwn dynnu'ch sylw at gwŷn a dderbyniodd Cyngor Sir y Fflint yn 2007[31];

*Nature of Complaints Received*

| Complaint (C) Comment (CM) | Nature of Complaint / Comment |
|---|---|
| 1 (C) | Human Resources issued English–only correspondence |
| 2 (C) | English-only street name plate in Leeswood |
| 3 (C) | Complaint about the English language being placed |

[31] Welsh Language Scheme Monitoring Report 2007-08 (Cygnor Sir y Fflint)

Terfysg yr Wyddgrug

Ym 1868, ‘roedd terfysg yn Yr Wyddgrug. Wrth edrych yn ôl at hanes, prif reswm am y trafferth oedd trigolion Coed-llai yn cwyno am y ffaith nad oedd rheolwyr y pyllau glo yna’n eu caniatáu i ddefnyddio’r Gymraeg wrth weithio. Wrth wybod daeth terfysg mawr yn syth o hyn, cawn y syniad o sut ‘roedd pobl yn teimlo am y Gymraeg yng Nghoed-llai a’i chyffiniau. Mewn gwirionedd, mae rhan fwyaf o drigolion y pentref yn dal i feddwl fel hyn.

Sillafiad ac Ystyr

Gall sillafiad enw’r pentref achosi trafferth i’r llawer yn weithiau. Yn ôl Geiriadur yr Academi mai Coed-llai ydyw’r term cywir, er nad ydyw cywirwr sillafu Microsoft yn ei dderbyn! Gwelir llwyth o wahanol sillafiadau ar arwyddion o gwmpas y pentref, rhywbeth a’m hachosodd i ysgrifennu llythyr at Gyngor Sir y Fflint.... ond, fel ‘roeddwn yn disgwyl, nid oes dim wedi cael ei wneud eto. Ond o leiaf mae’n eithaf braf gwybod bod, yng Nghoed-llai, gennym arwyddion dwyieithog. Nid oes cyfieithiad ar gael o gwbl ar arwyddion ‘Pontybotgin.’[32]

O ran ystyr yr enw ‘Coed-llai’, mae’n rhaid mynd yn ôl mewn hanes a gweld hen enwau’r pentref. Mae’n debyg y daw’r enw Cymraeg yn syth o’r Saesneg. Tynnaf sylw at lyfr Hywel Wyn Owen am enwau llefydd yng ngogledd-ddwyrain Cymru yma[33]. Credaf y dyweda ei lyfr bopeth sydd angen ei ddweud;

[32] Pentref bach yng nghyffiniau Coed-llai
[33] H. W. Owen, ‘*Cymreigio Enwau Lleoedd yng Nghylch Wrecsam*’ td. 3-4

*Legge* 1086
*Leygis Wode* 1314
*Leys Wode* 1368, *Leyswood* 1547
*Lysewood* 1547-51, *Lyswood* 1553
*Leswood* 1552, *Lessewood* 1566
*Leaswood* 1595, *Leasewood* 1598, *Leesewood* 1587, *Leeswood* 1599
*Lleswood* 1606, *lleeswood* 1663, *lleesewood* 1674
*leaswood als Coyd y llay vcha* 1614, *Leeswood als Coedlai* 1627, *Leeswood Brit.Koed y Lhai* c.1700
*Koetyllai (uchaf)* 1337, *Coet y llai* 1397-8, *coyt y llai* 1474
*Koed y Llai* c.1500, *Coed y Llay* 1567, *Coed y llay* 1569, *Koed y Lhai* c.1700
*Koytllay (Yssa)* 1416, *Coyd llai* 1481, *Coedllai* 1490, *Coed Llai* 1773
*Coet y llay als Leswood* 1553

***"Tarddiad Legge yw'r elfen Hen Saesneg lēah 'coedlan', coedwig', 'llannerch', 'sefydliad mewn llannerch', ac yn ddiweddarach 'gweirglodd, dôl'. O lēah daeth y gair lea 'gwaun', 'doldir' mewn Saesneg Modern. Ffurf ddadiol lēah oedd lēage 'wrth y llannerch', 'at the clearing', a'r ffurf honno sydd i'w gweld yn Legge. Mae lēah yn gyffredin iawn enwau lleoedd Lloegr (yr elfen fwyaf cyffredin efallai), fel arfer yn y ffurf Lea, Lee neu Leigh."***

***"Mae ei tharddiad o lēah i'w brofi yn ffurfiau Coed-llai, a hynny'n cyd-fynd â'r enwau lleoedd Saesneg eraill a fabwysiadwyd a'u Cymreigio yn y fro hon."***

<u>Diweddglo</u>

***"Ychydig iawn o bobl sy'n defnyddio'r dafodiaith heddiw" – Ieuan ap Siôn***

---

Am resymau a fyddant yn eithaf amlwg mewn munud, 'rwyf wedi osgoi dweud, hyd yn hyn, nad ydyw'r iaith a ddisgrifiaf yn y traethawd hwn yn gryf iawn o gwbl heddiw. Mae'n edrych yn dda i weld cymaint o bobl yn disgrifio eu hiaith i mi ac beth y gwnaethant ei glywed wrth siarad y Gymraeg yn yr hen sir, ond mewn gwirionedd nid ydyw'r iaith yn goroesi i'r oedrannau ifainc. Tuedda'r ysgolion Cymraeg yn y sir heddiw i gyflogi athrawon o Gaergybi i Gaerdydd, yn lle dim ond o'n sir ni. Byddai'r llawer yn dadlau nad ydyw hyn yn beth drwg o gwbl, ac byddwn yn cytuno'n llwyr, ond i'r rhai, fel myfi, sydd am gadw hen iaith yr hen sir yn fyw, ni wnânt ein swydd o sicrhau dyfodol i Gymraeg Sir y Fflint yn un hawdd!

Wrth siarad a phlant ifainc y sir, 'roeddent yn tueddu i droi at ffurfiau Cymraeg mwyaf llenyddol yn lle'r rhai dafodieithol. 'Roedd llawer ohonynt yn tueddi i ddefnyddio ffurfiau'r de hyd yn oed fel '*gyda*', sydd mewn gwirionedd wedi bod yn eithaf wan yng Ngogledd Cymraeg – er mai hyn oedd y ffurf a wnaeth William Morgan ddefnyddio wrth gyfieithu'r Beibl i Gymraeg safonol ym 1588! Wrth ofyn iddynt am ffurfiau, ymadroddion neu eiriau sy'n arbennig i'w sir, 'roedd o leiaf dipyn o 'obaith tafodieithol' i glywed mai tua 95% o eiriau gogleddol yn cael eu defnyddio yn Sir y Fflint, yn lle na'u termau deheuol cytras. Er hyn mae'n anffodus ailadrodd beth a ddywedais uchod, sef nid ydyw tafodiaith yr hen Sir y Fflint yn goroesi i'r ifainc. Nid ond y dafodiaith ogleddol gyffredin.

Nid ydyw dyfodol yr hen dafodiaith, yn fy marn i, yn edrych yn gryf iawn. Ac mae hyn yn wir am lwyth o dafodieithoedd dros Gymru i gyd hefyd. Diolchaf i bwy bynnag sy'n byw uwch ein pennau yn y nefoedd am y ffaith y cefais y cyfle, trwy fod yn y genhedlaeth olaf i gael clywed i Gymraeg Sir y Fflint, i drafod ein tafodiaith gyda thrigolion y sir sy'n dal i'w defnyddio.

Mae'r *Fflinneg* yn rhywbeth mae'n rhaid inni gael parch ynddi. Mae'r *Fflinneg* yn perthyn inni. Mae'r *Fflinneg* yn dangos i weddill Cymru pwy ydym.... *ac mae nene'n beth naci iawn i rywun fod gyn!*

## Llyfryddiaeth

Joseph **Biddulph**, '*A Handbook of West Country Brythonic - The Forgotten Celtic Tongue of South West England c.700 AD ('Old Devonian')*' – Gwasg Buddulph, Pontypridd, 1996

**Edwards**, J. M. MA, '*Flintshire*' - Gwasg Prifysgol Caergrawnt, Caergrawnt, 1914

**Ellis**, T. I. '*Crwydro Sir y Fflint*' - Gwasg Llyfrau'r Dryw, Llandybie, 1959

D. Simon **Evans**, '*Gramadeg Cymraeg Canol*' - Gwasg Prifysgol Cymru, Caerdydd, 1951

Hywel Wyn **Owen**, '*Cymreigio Enwau Lleoedd yng Nghylch Wrecsam*' - Bangor, 2000

Hywel Wyn **Owen**, '*The Place-names of East Wales*' - Caerdydd, 1994

Beth a Peter Wynn **Thomas**, '*Cymraeg, Cymrâg, Cymrêg.... Cyflwyno'r Tafodieithoedd*' – Gwasg Taf, Caerdydd, 1989

Goronwy **Wynne**, '*Iaith Sir Fflint - Geirfa a Thafodiaith y Gymraeg yn yr hen sir*' - Gwasg Gomer, Llandysul, 2005

## Geiriaduron

'*The Collins-Spurrel Welsh Dictionary*', Williams Collins Sons & Co. Ltd. Llundain - 1960

'*Geiriadur yr Academi - The Welsh Academy English-Welsh Dictionary*', Bruce Griffiths. Gwasg Prifysgol Cymru, Caerdydd - 1995

## Gwefannau

http://cy.wikipedia.org/wiki/Gwyddor_Seinegol_Ryngwladol

http://news.bbc.co.uk/welsh/hi/newsid_4550000/newsid_4557300/4557321.stm

**Cylchgronau**

Syr John Scott - Rhan o'i erthygl ar ddefaid yn "*Family News*" - Chwefror 2000

Brian D. Hodnett - '*The Origins of the Buckley Dialect*', yn "*Buckley*" (#33) - 2009

'"*Morun" yng nghwmni Stella Roberts*", Stella Roberts, '*Nene*' 19??

**Adroddiadau**

Welsh Language Scheme / Cynllun Iaith Gymraeg 2006-09 (Cyngor Sir y Fflint) - 2006

Welsh Language Scheme Monitoring Report 2007-08 (Cyngor Sir y Fflint) - Mehefin 2008

Cyfrifiad 2001 (Yr Iaith Gymraeg yng Nghoed-llai) (Office for National Statistics) - 25 Medi 2008

Deunydd yr Arolwg Ordnans - Comisiwn Ffiniau Llywodraeth Leol i Gymru – 2009

**Lluniau**

Lluniau o Gymru gyda Sir y Fflint o'i mewn: http://cy.wikipedia.org/wiki/Sir_y_Fflint

Lluniau o arwyddion (Coed-llai a'r Hôb): David a Teresa Rule

Hen lun o Queen Street, Coed-llai: http://anglesey.info/leeswood_photograph_archive.htm

Map Daearyddol cyntaf (+ Clawr): Edwards, J. M. MA, '*Flintshire*' - td 200-1

Ail fap daearyddol (heb linellau coch): Comisiwn Ffiniau Llywodraeth Leol i Gymru

Rhestr Enwau'r Sir: Comisiwn Ffiniau Llywodraeth Leol i Gymru

"Nature of Complaints Recieved": Welsh Language Scheme Monitoring Report 2007-08